# Gweithgaredd 2: Cadw neu dorri?

Taflen waith

MAE'CH DATA CHI'N CYFRIF

## Ella

Mae Ella yn 12 oed ac yn cael awr o amser chwarae ar ei chonsol bob nos. Yn ddiweddar prynodd ei rhieni gêm newydd iddi ar ei phen-blwydd, ac mae'r rhan fwyaf o'i dosbarth yn chwarae hefyd. Mae'n mynd â chi i fydoedd eraill i greu gwersylloedd i aros ynddyn nhw a'u harchwilio.

Bob tro byddwch yn mynd i fyd newydd, mae angen ichi gael math newydd o arian i brynu'r pethau angenrheidiol i greu'ch gwersyll.

Pan brynodd ei rhieni y gêm i Ella, fe brynon nhw gredydau iddi, ond mae'r rhain newydd ddod i ben.

Mae hi wedi dechrau cael llawer o hysbysiadau yn gofyn iddi a fyddai hi'n hoffi prynu mwy o gredydau.

!

Ydych chi'n meddwl bod y gêm yn cadw at y Cod Plant?

## Jaden

Mae Jaden yn 14 oed ac wedi penderfynu ymuno ag ap newydd yn ddiweddar. Mae'r ap yn cynnwys cyfle i sgwrsio ac mae Jaden wedi bod yn sgwrsio gyda rhai o'i ffrindiau.

Mae'n sbort ond mae Jaden eisiau gwneud yn siŵr bod yr ap yn ddiogel iddo ei ddefnyddio.

Mae'n gweld botwm sy'n dweud 'polisi preifatrwydd'. Drwy bwyso hwn, mae'n cael gwybodaeth ddefnyddiol a syml am sut mae'r ap yn gweithio ac mae yna fideo gyda mwy o wybodaeth i bobl ifanc.

!

Ydych chi'n meddwl bod yr ap hwn yn cadw at y Cod Plant?





ico. Information Commissioner's Office

# Gweithgaredd 2: Cadw neu dorri?

Taflen waith

MAE'CH DATA CHI'N CYFRIF

## Gêm Noah

Mae Noah, 10 oed, wedi cael gwybod am ap gêm newydd, am ddim. Mae'n ymwneud â'i hoff gymeriadau anime.

Mae'n gofyn i'w fam ac maen nhw'n lawrlwytho'r ap gyda'i gilydd. Ar ôl ei lawrlwytho a gorffen cofrestru, mae'r ap yn gofyn i Noah adolygu ei osodiadau.

Mae'r gosodiadau preifatrwydd wedi'u gosod ar y lefel uchaf yn barod.

Ydych chi'n meddwl bod y gêm hon yn cadw at y Cod Plant?

## Ap Shareen

Mae llystad Shareen yn ei helpu i gofrestru ar ap newydd sy'n ymwneud â dillad a ffasiwn. Mae Shareen yn rhoi ei phen-blwydd i mewn i'r ap wrth gofrestru. Mae hi'n 13 oed.

Mae hi'n dechrau cadw lluniau o'r mathau o ddillad mae hi'n eu hoffi yn y llyfr lloffion ar-lein.

Y diwrnod wedyn pan mae hi ar yr ap, mae neges yn ymddangos yn dweud wrthi am sêl ddillad yn ei hardal.

Mae hi'n sylweddoli bod yr ap yn defnyddio ei data lleoliad.

Ydych chi'n meddwl bod yr ap hwn yn cadw at y Cod Plant?

ico. Information Commissioner's Office